Y

# BRIODAS OREU;

NEU'R

## Anghydmarol Briodas

RHWNG Y

## Creawdwr

## A'R CREADUR.

A bregethwyd gan y Parchedig Mr. RALPH ERSKINE, A. B.
Oddi ar *Esaia* liv. 5.

Ymgrymmed pawb i lawr i Enw'r Addfwyn Oen;
Yr Enw mwya' mawr erioed a glywyd son
Y clod a'r mawl, y parch a'r bri.
Fo byth i Enw'n HARGLWYDD ni.

* *Y mae i ni Etifeddiaeth dêg.---Etifeddiaeth anllygredig, ddihalogedig, a diddiflanedig.*

SAL. XVI. 6. a 1 PEDR I. 4.

On Jordan's stormy bank I stand,
And cast a wishful eye;
In Canaan's fair and happy land,
Where my * Possessions lie.

Pe gwelai'r Byd ef fel y mae,
Hwy ddont i'w garu yn ddilai

Caes Newydd:

ARGRAPHWYD DROS EVAN LEWIS,

GAN J. BAKER, BRISTOL.

# Canys dy Briod yw yr hwn a'th wnaeth. *Esay* 54, 5.

Y PROPHWYD *Esaia* gwedi llefaru yn helaeth am ddioddefaint Grist, a'r Ffrwythau bendithiol ac effeithiol o honynt, ymhlith pa rhai, un ydyw, y byddai iddo gael hâd lliosog i credu yntho, a hynny pan oedd yr Iddewon gwedi eì wrthod, y byddai y Cenhedloedd ei dderbyn êf yn llawen: ac fel hyn yn rhag-weled, trwy Yspryd Prophwydoliaethol, y Sefydliad ogoneddus o'r eglwys genhedlig, y mae efe yn torri allan mewn cân orfoleddus yn nechreu'r bennod hon; lle mae'r prophwyd yn cyfeirìo ei ymadroddion at yr eglwys a diweddi Duw yn y geirìau hyn, "Cân, di ammhlantadwy nid esgorodd; bloeddìa ganu, a gorfoledda, yr hon nid esgorodd: o herwydd amlach meibíon yr hon a adawyd, na'r hon y mae gwr ìddì, medd yr ARGLWYDD. Llê mae gennym addewidíon ardderchog o ffrwythlondeb a dedwyddwch yr eglwys cenhedlig; a hyn a ymalaethi'r hyd y bummed adnod, pa un sy'n cynhwys geirìau'r testyn; lle mae gennym resymmau o'i dedwyddwch a'i ffrwythlondeb pa un oedd o'r blaen yn weddw Anffrwythlon, Canys dy Briod yw yr hwn a'th wnaeth: Efê yr hwn a'th wnaeth o ddim, am hynny gall yn

hawdd cyflawni yr holl addewidion hyn, pa mor anhebig bynnag yr ymddangosant i fod, Efe yr hwn a'th wnaeth di yn bobl, i'e, pa un sydd rhagor, yr hwna'th wnaeth di ei bobl, Efe a'th addef di fel ei ddiweddi, ac a weithreda rhan priod i ti.

Mi a gâf roddi heibio rhagor o rhagymadrodd ac eglurhad, ac hefyd pa beth bynnag a elli'r ddweud o ddeuti'r undeb allanol rhwng Crist a'r eglwys weledig, fy unig fwriad sydd, ar y pryd hwn, ddim ond llefaru ychydig am yr undeb tyfewnol Ysprydol. a'r priodasol undeb rhwng Crist a'r eglwys Anweledig, neu Crist a'r credadyn, fel ag y darlunir y ffurfioldeb o briodas: a'r peth a fynnwn ei gynnyg i chwi ar y testyn, yr wyf yn ei osod o'ch blaen chwi yn yr Athrawiaeth osodiadawl hyn.

I fod undeb priodasol rhwng Crist a chredinwyr, yn yr hyn y mae efe yn cyflawni lle priod iddynt hwy, a hwythau lê priodasferch a diweddi iddo Fe.

Yn y darluniad o hyn, mi a fynnwn ymgais y tri pheth hyn.

1af. I profi, I fod y cyfryw undeb priodasol rhwng Crist a chredinwyr.

2. Llefaru am Nattur y briodas hyn.

3ydd. Rhoddi rhesymmau pa ham mae Crist yn dyfod dan y Cyfryw undeb iw ei bobl.

4ydd. Gwneuthur cymhwysiad o'r testyn.

1af. I gadarnhau'r Athrawiaeth, i fod undeb priodasol rhwng Crist a chredinwyr, hyn a ym-

ddengys oddiwrth y ddau ystyriath hyn. 1af. oddiwrth y dull o gyfarchiaid a rhoddi'r i Grist mewn perthynas gan credinwyr pa mor fynnych y mae'r ddiweddi yn ei alw Ef ei phriod yn llyfyr y Caniadau? Megis pren afalau ym mysg preniau y coed, felly y mae fy anwylyd ym mhlith y meibion. *Fy* anwylyd sydd eiddo fi, a minnau yn eiddo yntau, Cau. ii. 3.-16. ac medd yr apostol. 2 Cor. xi. 2. mi ac'h dyweddiais chwi i un gwr, ic'h rhoddi chwi megis morwyn bur ì Grist.

Yn ail, Yr undeb priodasol rhwng Crist a chredinwyr a ymddengys oddiwrth y dull o gyfarchíad a rhoddi'r i gredinwyr yn yr ysgrythyr pa mor fynnych y mae efe yn ei galw hi ei hanwylyd, ei ddiweddi.—mor dêg yw dy garíad, fy chwaer, a'm diweddi, Can. iv. 9, 10. yn y Datcuddiad 19. 7. y mae'r eglwys yno, (neu'r credinwyr yn y casgliadol cymhwysíad) yn cael ei chyfenwi y diweddi, gwraig yr oen. Daeth priodas yr oen, a'i wraig ef a'i parattôdd ei hun. nid traid i ni sefyll i brofi hwnnw ag sydd mor eglur,, nid raid í mi ddweud dím rhagor i'w cadarnhau nag ail adrodd y teslyn, Dy Briod yw yr hwn a'th wnaeth. *Ac* am hynny yr wyfynddyfod.

Yn Ail, I lefaru am nattur y briodas hyn ac yma ni a fynwn ystyriad yn fyrr.

1af. Y partion sy'n príodí. Yn ail, ammod y briodas. Yn 3ydd.[e] Defnyddíau y briodas. 4. Yr eff-

eithiau o honi. 5ad: Pa fodd y mae'r briodas yn cael ei chario ymlaen. 6fed. Pa fodd ei dibenir.

(1af.) Meddaf, gadewch i ni ystyriad y partion sy'n priodi, pwy nhwy'r Priodfab, a phwy nhwy'r ddiweddi. 1af. gan hynny, y Priodfab yw Doethineb Duw; a holl drysorau doethineb a gwybodaeth a gair ynddo fe: Y mae efe yn gwybod holl eisiau'r ddiweddi, ac y mae yn barod iw diwallu hwynt.—Ar y llaw arall, y ddiweddi cyn iddi ymbriodi ag ef, yw'r ynfydes mwyaf cwilyddys tu yma i uffern, ei hynfydrwydd a ymddengys wrth barhau i ymwrthod priodi ag Ef, i wrthod rhoddi ei bodlonrwydd i'r Priodfab Nefolaidd hyn.

Yn ail, y Priodfab yw tragwyddol Fab Duw; unig Fab y Brenin, y Brenhin a wnaeth briodas yw Fab: Efe yw gwaed Brenhinol y nefoedd.—Ar y llaw arall, peth yw achau'r ddiweddi? Nid traid iddi ymffrostio ei achau, dy dad oedd Amoriad, a'th fam yn Hitties. Ezec. xvi. 3, y mae dirfawr wahaniaeth yma.

3ydd. Y mae y Priodfab yn Etifedd pob peth: y mae gantho bob cyfoeth. ANCHWILIADWY olud Crist,—Ond beth oedd y ddiweddi werth cyn iddo fe ei phriodi? y mae hî yn waeth na bod heb ddim, tlodi ei hûn, ac nid yn unig yn fegar, ond mewn dyled, ac y mae Crist yn foddlon i dalu ei dyled.

4ydd. Y mae'r Priodfab yn lân ac yn ogoneddus. Yr holl Seraphiaid a cherubiaid y nef, yr holl feibion dynion yn y byd, yr holl bennau

coronedig ar y ddaear, yn ei holl Amgylchiadau o ogoniant; nid ydynt ond fel darnau duon o ddaear i'w cydmaru a'r Priodfab Gogoneddus hyn.

Ar y llaw arall, beth yw'r ddiweddi cyn iddo ef ymbriodi a hî? Y mae hî hyd yn oed mor dduad ag y gall y diawl ei gwneuthur hî, nid yn unig yn llewpard, yn llawn brychau yma ac accw, ond yn Ethiopian, yn hollol ddû a ffiaidd. Pan ei bwri'r allan i'r cae agoryd i'w ffieiddio ei pherson, y mae hi yn ddrych o ddychryn a thrieni, etto pryd hynny y mae yn ddydd priodas, ac yn amser Cariad.

(2) Beth ydyw Ammodau'r briodas; yr ammodau o honi ar ei ran Ef ac ar ei ran hithau? er fod y cwbl yn perthyn ì Grist, etto. ì lefaru am ammodau mewn synwyr anaddas, y mae Efe yn gofyn ganthi hî peth y mae Efe yn ei weithio ynddi hî, hynny ydyw. 1af. Iddi fod yn ysgaredig oddiwrth bob priod arall, a rhoddi heibio yr holl ddelwau a'r cariadau eraill; yn neullduol, iddi fod yn ysgaredig oddiwrth y ddeddf, fel ag y gallo ymbriodi a Christ: nid traid iddi uffuddhau'r ddeddf ar egwyddor oi nerth ei hûn; nag megis cyfammod gweithredoedd, a hynny, trwy uffyddod, y gallai bwrcasu hawl ì'r Nefoedd; nag ì foddhau cydwybod naturiol, nag ychwaith yn unig ì ddiangc rhag uffern, a gwneuthur cyfiawnder o'i hyfydddod: y mae yn rhaid iddi fod yn ysgaredig oddiwrth y priod yma. yn ail, Ar ei

rhan hî y mae yn ofynol, iddi fod yn foddlon a'r Priod hyn ei hûn, megis rhan fawr yr enaid, fel na chaffo efe cydymgarwyr, ddim cydgeiswyr yn ei serchiadau, neb ì eistedd ar yr orsedd gyd ag Ef: y mae yn rhaid ìddi gadw'r ystafell bennaf ì Fab duw: etto, ar ei rhan ef, y mae Efe yn cyfammodi, 1af. y gwnai efe ei hûn drwoedd ìddi hî, oll ydyw, sydd ganddo, oll o * bwrcasoedd, oll a addawoedd, efe a wna drosoedd iddi hi fendithion y Cyfammod tragwyddol. O ammod felus ydyw hon! a braint fawr yn wir! yn ail, y mae efe yn Cyfammodi ì cyflawni'r holl swyddau gogoneddus o briod ìddi hî; ì ddarparu drostì hi, ei dilladi hi, ei chalonnogi a'i chysuro hî, a gwneuthur pob peth drosti hi ag sydd rhaid: dyma swm y Cyfammod, canys, i lefaru mewn addasrwydd, y mae Grist yn pob peth, ac yn gwneuthur y cwbl yn y mattr hyn; a'n rhan ninnau a wneir ganddo ef ynom ni. Hos. ii. 19, 20, a dyweddiaf di a mi fy hun yn dragywydd; ie, dyweddiaf di a mi fy hun mewn cyfiawnder, ac mewn barn, ac mewn tiriondeb, ac mewn trugareddau. A dyweddiaf di mewn ffyddlondeb; a thi a adnebyddi yr Arglwydd. Y mae Crist yn seinio'r cyttundeb drosto ei hûn â hithau hefyd. Mi 'ath ddyweddiaf di a mi fy hun mewn cyfiawnder; myfi a gyflaw-

---

* Mae ynddo'i hunan drysor mwy,
Nâ fedd y ddaear lawn:
Fe brynodd ì mi fwy nâ'r byd,
Ar groes-bren un prydnawn.

naf y gyfraith, a bodloni iniondeb Duw, mi a'th ddyweddiaf di mewn tiriondeb; er nad-oes dim ynnot ti i ddenu fy nghariad, ond llawer i annog fy nghasineb, etto mi â orch fygaf dy holl ammherffaethiau di, ac a osodaf fy nghariad arnat. mi a'th ddiwcddiaf di i mi mewn trugaredd; mewn trugaredd maddeuol, trugaredd Sanctieddhaol, trugaredd cynhaliol, a thrugaredd cyssurol ond rhag i'r ddiweddi feddwl pa bryd bynnag y byddo hi yn pechu y byddai ysgariad, ac a geill torri a mynd ar cerdded, ac am hynny y canlyn, mi a'th ddiweddiaf i mi fy hun mewn trugareddau, y mae Efe yn siccr-hau ei wirionedd er cyflawni yr ammodou ar ei ran hi ac yntau hefyd, etto gan hynny,

(3ydd) Beth ydyw defnyddiau'r briodas hyn ?

1af. Y mae yn briodas ddirgelaidd iawn, bod y CREAWDWR yn cymmeryd gwaith ei ddwylaw yn ddiweddi iddo, nid yn unig pan yr oedd yn forwyn diniwidrwydd yn y dechreuad, fel ac y daeth allan o'i ddwylaw creadigol, ond pan oedd gwedi ei difwyno a gwenwyn y diafol, y byddai iddo fe ei chymmeryd yn ddiweddi; dy briod yw yr hwn a'th wnaeth-cyssylltiad rhyfeddol yddyw hwn. Pe byddai i Angel gogon-eddus ymbriodi ag abwydyn ymlysgedig, a Bren-hin gyda begar, ni fyddai yn beth mor rhyfeddol; ond y Gwneuthyrwr i uno ei hûn a gwaith ei ddwy-law ! nis gellir dychmygu cymmaint pell-der rhwng un peth, na rhwng y CREAWDWR â honno a ddaethpwyd allan o'r bru anffrwyth-lon o ddim, y creadur, ag etto y maent mewn

undeb priodasol; dy Briod yw yr hwn a'th wnaeth.

2. Y mae y briodas hon yn anhawdd ac yn caled. Y mae yn wir, nid oes dim yn rhi caled i Hollalluawgrwydd; etto fe gafoedd nattur ddynol Grist llawer i wneuthur ac ef: er ei fod yn cael ei cynnal gan y nattur ddwyfol, etto yr oedd yn ofynol iddo nofio trwy afon ei waed ei hûn, cyn iddo gael ei ddiweddi. Efe a fodlonoedd iniondeb duw, sefydloedd cyfammod newydd, y mae yn rhaid gwneuthur hyn oll mewn perthynas i'r briodas hyn.

3ydd. Y mae y briodas hon yn briodas Annattodol; y mae angau yn dattod pob perthynas arall, ond yn cynnyddu'r undeb cyfeillgar hyn: ni chaif dim wahanu Crist a'r credadyn, canys y mae yn ddiogel gennyf, medd Paul, na all nag angau, nac einioes, nac angylion, na thywysogaethau, na meddiannau, na phethau presennol, na phethau i ddyfod, nac uchder, na dyfnder, nac un creadur arall, ein gwahanu ni oddiwrth gariad Duw, yr hwn sydd yng Nghrist Iesu ein Harglwydd. Rhuf. vii. 38, 39.

(4ydd.) Beth ydyw'r effeithiau o'r briodas hyn?

1. Yr effaith cyntaf a digyfrwng ydyw undeb agosaf rhwng Grist a'r credadyn. Yr undeb hyn, er ei fod yn llai nag undeb personol, a hynny mewn rhyw ystyriaeth, etto y mae yn fwy nag undeb gwladwriaethol, yn fwy nag undeb moesol: y mae yn undeb agos iawn. Y Priodfab, Crist, y mae efe yn rhoddi y'w ei

ddiweddi ei yspryd ei hûn, yn trosglwyddo dylanwadau bywydol, oddiwrth y Pen gogoneddus iddi hi; ac y mae hi yn glynu, trwy ffydd a chariad, yn agos atto ef: ac y mae Duw yn addunedu y byddai iddo êf i wneuthur i dy Israel lynu wrtho ef, megis gwregys am lwynau gwr. Jer. xiii. 11. y mae Efe yn gwneuthyr i'w ddiweddi, er gwaetha ei holl ynfydrwydd, er gwaetha ei holl elyniaeth, er gwaetha ei holl elynion a themtasiwnau, i lynu wrtho ef.

2. Effaith arall o'r undeb hyn, cymmundeb melus, cydgyfeillach o'r ddwy ochr: y mae efe yn gwledda gydâ hwynt a hwythau gydag yntau; y mae efe yn chwythu ar ei gardd hi; yn bywiogau a bywhau ei grasusau; ac pryd hynny y mae efe yn dyfod ac yn bwytau ei ffrwythau hyfryd.

3. Effaith arall, ydyw, cyfeillgarwch, pa un sydd cydunawl a'r pethau blaenorol: nid ydyw efe yn ei trîn hwynt fel dieithriaid, ond fel cyfeillion; ac nid fel cyfeillion yn unig, ond megis ei ddiweddi ei hun: y mae efe yn trosglwyddo iddi hi, ac yn llefaru yn gyssyrus ag yn garedig wrthi hi. Y mae yn rhyfeddol y fath ymddarostyngiad y wna Duw, rai prydiau: a'r credadyn a all fod yn fwy cyfeillgar gydâ Duw, nâ chyda'r holl fyd; ac â eill ddweud wrth Duw peth nas gall Ddweud wrth neb arall.—Felly y gwelwch ychydig o effeithiau o'r briodas hyn.

(5ed.) Pa fodd y cariwyd y briodas yn y blaen?

Yr ydwyf yn atteb, mewn gair. ar ei ran ef efe a'i cariwyd yn y blaen fel hyn.

1af Efe a rhoddodd ei law i'w ei Dad, ac a ymrwymodd iddo yn y cyfammod o brynedigaeth, yn nhragwyddodeb, y byddai iddo ef wneuthur pob beth anghenrheidiol er cyflawni y briodas.

2. O herwydd y mae yn rhaid i fod undeb natturiaethau rhwng y Priodfab a'r ddiweddi; (nid oedd yn bosibl i ni allid ymbriodi a'r nattur ddwyfol;) am hynny Efe a ddaeth yn ddyn, ae a cymmerodd arno ein nattur ni, fel ag y byddai undeb o natturiaethau.

3. O herwydd bod y ddiweddi yn gaethferch, y mae efe yn ei phryni hi oi chaethiwed, yn gosod ei hun yn ei llê hi, yn cymmeryd arno ei dyled, ac yn dalu y cwbl yr oedd arni hi î uniondeb, ag yna yn cymmeryd ymlaen a hi. Ond, ar ein ran ni, braidd dim yn y byd, nid oedd gennym un llaw yn y cyfammod o brynedigaeth, ddim un llaw yn y ddyfais o iechydwriaeth; ni wyddem ni ddim am y gorchwyl; nid oedd gennym ni un meddyliau am waredwr; yn haeddu dim ond digofaint pûr: yr oeddym ni yn gorwedd, mewn cyflawn boddlonrwydd, yn tiriogaeth y diawl pan oedd Crist yn cario ymlaen y briodas.

(6fad.) Pa fodd ei dibennir ar ei rhan ef?

1af. Y mae efe yn danfon allan ei cennadau i caru drosto ef, megis ag y gwnaeth Abraham i was dros Isaac; ac y mae gwaith mawr, yn

wir, i wneuthur iddi rhoddi ei chydsyniad. Gadewch i angylion yn y nefoedd uno ei areithiau o cynhoriad, nis gallant lwyddo gydag un enaid, oni byddai i ddydd dychweledig i ddyfod i ben: ond y mae'n rhaid iddynt yn wastod llefaru yn têg wrthi hi. Pa mor areithyddawl oedd gwas Abraham dros ei feistr! nid oes ganddo ond un mab, ac mae gan y mab hwnnw gyfoeth mawr; nid yw yn ymofyn un ran gydâ Rebecca, dim ond ei chaniattad. Fel hyn y mae yn areithio ac yn bostio yn fawr iawn, ac yn perswadio gyda'r cymhelliad mwyaf. Ond etto y mae gan cennadau Crist rhagor o orchymmyniad, pe byddai dim ond ein llygaid ni yn Agoryd: efe a'i danfonir allan i caru dros y Priodfab, ac yn ei enw ef i canmawl Crist.

2. Y mae efe yn dibenni'r briodas fel hyn, y mae'r ddiweddi yn anwybodus truenus o'i gwir ddedwyddwch, am hynny y mae ei Dad yn ei thralloi hi am y dyled sydd arni hî iddo ef; ag y mae'r person truenus yn gael ei gwthio, dros rhyw amser, i fynydd Sina; ac yno y mae Duw yn disgyn yn yr holl amgylchiadau ofnadwy o fawrhydi! y mae efe yn tarannu yn ei herbyn hi, yn ei melldithio hi; Melldigedig yw bob un nid yw yn aros yn yr holl bethau a sgrifenir yn llyfr y ddeddf, i'w gwneuthur hwynt. Gal. iii. 10. Y mae Duw yn gofyn yr holl ddyled; y mae cydwybod yn ruo ac y mae'r diawliaid gwedi gael ei gollwng yn

rhydd; y mae hi yn ofni uffern a digofaint; ac y mae Duw yn mynegi, yn yr efengyl, y geir torredigwr truenus fyned i carchar, a gorwedd yn dragwyddol yn uffern, os na chymmerai ei fab ef, ac ymbriodi ag ef, credu ynddo. Fel hyn y mae'r ddiweddi yn gael ei gwasgu i cyfyngder: y mae rhai yn gael mwy, rhai yn gael llai o waith y gyfraith; ond y mae pawb yn gael ei darostwng a'i dryllio mewn rhyw fesur ac sydd yn ymbriodi â Christ: y mae efe yn danfon allan ei Yspryd i argyhoeddi'r byd o bechod. Ond ni wnai hyn un o'r ddau; ac am hynny.

3. Y mae'r Priodfab yn gweled na wna dim ond darostyngiad y tro; ac am hynny y mae efe yn ymddangos yn ei holl ogoniant: pryd y mae'r ddiweddi yn llawn o ofnau, petrusdai, ac anesmwythdrau, pan y mae dychrynfaidd Duw yn ei amgylchu hi, â saethau'r Hollalluog yn yfed i fyni ei hysprydodd, â phan y mae hi yn gwaeddi allan, Peth a wnaf fi? I pa le y gaef fynned? Pryd hynny y mae'r Priodfab yn ymddangos yn ei ardderchowgrwydd a gogoniant, ag yn dywedyd, Wele fi, Wele fi; ac y mae hi yn gael golwg arno nes dwyn ei chalon, ac ymalaethu ei henaid: pryd hynny y mae'r Yspryd yn gael ei ddanfon i ei fendyrfynu hi i rhoddi ei chydsyniad. Y mae amlygiad o'i ogoniant yn goleuo ei meddwl a'i hyspryd, ac yn fuan y mae gras, ar yr ewyllys, yn tynnu'r holl galon ar ei ôl ef; fel

pe byddai bosibl i flino â phoenidio'r ddiweddi ar ddydd y briodas, fe fyddai o herwydd ei hynfydrwydd am ei wrthod ef cyhyd.—Ond pa beth a wneir ar rhan y ddiweddi, er dibenni'r briodas? dim yn y byd; ond y mae'r holl enaid yn cael ei alluogi i gydsynio mewn Gwaredwr; ac y mae'r credadyn yn barod, ar y cyfryw amser, i ddywedyd, Efe yw fy Arglwydd, fy Nhuw, fy Nerth, fy mhob peth, ac a gaiff fod dros byth.—Fel hyn chwi a gawsoch ddarluniad byrr iawn ar y pennau blaenorol, mi gaf yma, cyn im' fyned ymlaen at rhesymmau'r athrawiaeth, gynnyg ychydig nodau ar amser yr undeb briodasol hyn rhwng Crist a chredinwyr, Ni a ddywedasom wrthych pa fodd y dibenwyd ac y cyflawnyd y briodas hyn gan Grist, ac 'rwan ni á ddywedwn, i fod dydd trefnedig ac amser i ddibennu o hono: ac ar y pen hyn ni a allwn sylwi.

1. I fod diwrnod dau-ddyblyg pa un yr ydym i ddal sylw arno yn y briodas hyn, hynny yw, sef diwrnod y briodas ar y ddaear, a diwarnod y cyflawniad yn y nefoedd; ac ni a allwn gydmaru'r rhai'n ynghyd mewn ychydig eiriau.

1. Y mae dydd y briodas yma yn cael ei ddwyn ymlaen gydâ boreu dywyll iawn, neu yn hytrach yn brydnawn, ar rhan y ddiweddi, gydâ digofaint Duw, a'r ddeddf: megis ag y

dywedpwyd, yr hwyr a fu, a'r boreu a fu, y dydd cyntaf; felly, yn yr ammod hyn, y prydnawn o ddychrynfeudd deddfol, o'r hyn lleiaf rhyw ddarostyngiad, yn dyfod ymlaen yn y boreu: ond am y cyflawniad, y mae llawer iawn o Ogoniant o'i flaen ef, yr enaid gwedi ei gymmeryd i'r nefoedd eisoes, a'r corph yn cysgu yn dawel yn y * bedd, gwelu pa un y gorweddodd y Priodfab dri diwrnod o'i blaen hi.

Yn nhydd y briodas, pan y mae'r person yn cael goruwchfiaeth ar ei lygredd, ac yn caffael ond ychydig gynhyrfiad o honno, na dim gweithrediadau teimladwy o hono, etto y mae plaid oddifewn, ar yr un pryd, ac sydd yn gwrthwynebu y briodas, ac a fydd ar ol hyn yn dodi i maes ei ben, ac a fydd yn barhaus yn ymosod yn erbyn y credadyn, trâ y byddo efe ar y ddaear: ond, yn nhydd y cyflawniad, nid oes dim o'r cyfryw beth; ddim un gelyn, ddim un pechod, ddim llygredd; ond y mae'r holl enaid yn myned allan yn gyflawn ar y Priodfab.

3. Y mae'r briodas yn cael ei chario ymlaen yn ddirgelaidd; fe allai fod y person yn eisteddd wrth eich ochr, ac nid ydych chwi yn canfod, nag yn gwybod pa bryd y mae Crist yn gwneuthur y briodas; neu fe allai ar ei benliniau yn nhre, y mae goruchwiliaeth ddirgelaidd: ond y cyflawniad a

* Ag yno cysgaf hûn, heb deimlo gwyn na gwae;
Nes del Arch-angel dro i'n defro ni bob rhai.

fydd o flaen myrddiynau o angylion, myrddiynau o seintiau, a myrddiynau o edrychwyr. Dyma lle mae gwahaniaeth mawr: ar ol i ddydd y briodas fyned drwodd, fe all y ddiweddi rhoddi llawer traws-edrychiad ar ei hên gariadau, gan ddisgwyl yn ol i'r Aipht, ymadael â'i phriod, ammeu ei gariad, anghoelio ei air, yn ofni ei oruchwyliaethau: ond, ar ol y cyflawniad, dim cysgod o bechod, dim cysgod o eiddigedd, dim cysgod o gamsyniad, neu ofnau, ni's gall ei goddiweddyd hi dros byth; dim un cwmmwl i gyfryngu, o herwydd ni chaiff haul cyfiawnder byth ei thywyllu mwyach. Ond etto,

Yr ail sylwiad ydyw, bod amser pendant y briodas gwedi ei gydsynio arno gan y Priodfab a'i Dad, er pob tragywyddoldeb; yr un funud pan y caiff y ddiweddi ei gwneuthur i seinio'r cyfammod, a ffoi at Grist, a thywallt ei holl enaid arno ef; y mae'r amser pennodol hynny gwedi cyttuno arno rhwng y Tad a'r Mab, yn y cyfammod o brynedigaeth, er tragywyddoldeb.

Sydd. Ni a ddaliwn sylw, fod y Priodfab yn disgwyl yn amyneddgar am y funud honno a gyttunwyd arni rhwng y Tad a'r Mab: y mae efe yn ei chwennychu. Y mae'r credadyn lawer pryd yn barod i feddwl, O, nid yw Crist yn foddlon! mi a osodais ddiwrnodau o'r neilldu, myfi a aethym ar fy ngliniau, myfi a'i ymofynais yn ac o ddeutu'r ordeinhadau hyn ac eraill, ac er hynny ni allwn ei gael ef: fe a'm

trochwyd bron yn uffern gan fy nghystyddiau, etto ni thoddodd fy nghalon erioed: yn ddiau nid yw Crist yn foddlon. O gadewch i mi ffoi o'r cyffion cableddus hyn! Y mae'r Arglwydd IESU yn foddlon; ond nid ydyw y cyflawnder o amser etto gwedi dyfod: y mae munud neillduedig i ddyfod at ei bobl, ac am hon y maent i aros; ie, canys am hon y mae efe yn aros ei hunan, yn ol yr ysgrythur honno, pa un a gaiff ei ddarllain i'r rhei'ny nad ydynt yn gallel cael hynny mewn dyledswyddau ac ordeinhadau pa rhai y buont yn hir ddisgwyl am dano; Esaia xxx. 18. Ac am hynny y disgwyl yr Arglwydd i drugarhau wrthych, ie, am hynny yr ymddyrchafaf i dosturio wrthych; canys Duw cyfiawnder yw yr Arglwydd; gwyn eu byd y rhai oll a ddisgwyliant wrtho. Efe a aros am funud neillduawl yr amser, am ddydd iechydwriaeth, efe a wyr am yr amser cymmeradwy. Y mae'r garan, y wennol; a'r ciconia yn adnabod eu hamserau, trwy'r anian-duedd a rhoddodd Duw iddynt; ac oni wyr efe ei amseroedd ei hun? ie, y mae efe yn disgwyl am le i fod yn drugarog.

4ydd Sylwiad ydyw, Pan y mae'r amser gwedi dyfod, pryd hynny y mae cyssylltiad melus o bob amgylchiadau i ddibennu'r gwaith: y mae pob peth yn cyd-weithio yn hyfryd ynghyd i gyflawnu y briodas; y mae cydwybod yn myned i weithio o ddê, y mae'r gair gwedi ei wneuthur yn fywiol, y mae'r Yspryd yn gweith-

redu yn awdurdodol ac yn felus yn yr enaid. y mae cydsylltiad dedwydd o bob amgylchiadau cymmwysiadol, i derfynu y ddiweddi, a dwyn allan ei chalon.

5ed Sylwiad ydyw, Fod amrywiol arwyddion a nodau am y diwrnod hwn, trwy ba un y gellir ei adnabod. Beth ydyw'r arwyddion o hono? chwi a gewch ddywedyd. Ni chaf sefyll ar hyn, dim ond ei fod yn ddiwrnod o oleuni; y mae goleuni mawr yn torri i mewn ar y meddwl: y mae yn ddiwrnod o gariad; y mae goleuni mawr yn torri i mewn ar y galon; y mae yn ddiwrnod o nerth, ym mha un y mae'r ddiweddi yn cael ei pherswadio a'i gorchfygu; rhwystrau yn cael eu codi, gelynion yn cael eu congcweri, ac y mae ewyllys y diweddi yn cael ei llunio mewn cydsyniad; y mae yn ddiwrnod o rhyfeddod. O y fath lawen-lewyg o rhyfeddod sy'n codi ynghalon y person! mi a fum ddall, ynawr rwy'n gweled; yr oeddwn yn wan, ynawr rwy'n gadarn: y boreu hwn fe allai, mi a fum dan gystudd, a than ddychrynfeydd Duw, ac yn awr efe a'm dygodd â diddanwch ei Yspryd: yr oeddwn i yn ofni uffern; 'rwan mae gennyf obaith am nefoedd a bywyd tragywyddol. Oh y fath ddiwrnod o rhyfeddod ydyw! Yn ddiweddaf, y mae yn ddiwrnod o addunedau; y mae'r enaid yn barod i dorri allan ar y cyfryw ddiwrnod, gan lefain pa beth a gaf lefaru am dano ef. Pa beth a gaf ddioddef erddo?

Y 6ed, a'r sylwiad diweddaf ar y pen hyn ydyw, ei fod yn ddiwrnod pennodol o'r briodas hon, y Priodfab yn egluro ei ogoniant i'r ddiweddi, pan y mae yn hyspyssu i'r enaid, DY BRIOD YW YR HWN A'TH WNAETH, y mae efe yn dangos ei ogoniant, ei ogoniant anymddibynol, ei ogoniant cymhariaethol, ei ogoniant perthynasol! y maent oll yn un ar y matter, etto y mae gwahaniaeth ffurfiol i'w ei ystyried ynddynt.

1. Ei ogoniant anymddibynol a amlygir. Beth y mae'r enaid yn ei weled, pa un sydd gwedi cyttuno ag ymbriodi â Christ? OCH! nid yn gweled dim ond breuddwydion a thybiau; ond pan y mae'r enaid gwedi ymbriodi â Christ, y mae efe yn ei drin ef megis Moses, y mae efe yn gwneuthur i'w holl ogoniant ef fyned heibio iddo ef: y mae'r person yn cael canfod golwg ar briodoliaethau gogoneddus Fab Duw.

2. Y mae efe yn egluro ei ogoniant cymhariaethol: gogoneddusach wyt a chadarnach na mynyddoedd yr ysbail, teccach na meibion dynion: y mae'r ddiweddi, y credadyn, yn ei weled ef fel pren afalau ymhlith prennau'r coed, ymhob modd yn anghydmariaethol. Pa beth bynnag y cydmarir ef iddo, y mae efe yn ei rhagori: os ydyw efe yn lili, y mae efe yn lili y gwastadedd, os ydyw efe yn rhosyn, y mae efe yn rhosyn Saron; os ydyw efe yn blan-

higyn, y mae efe yn blanhigyn enwog; os ydyw efe yn feddyg, y mae efe yn feddyg o werth; os yn ddadleuwr, y mae efe yn ddadleuwr gyd â'r TAD: y mae efe yn cael ei ddarlunio heb un cydmariaeth.

3. Ei ogoniant perthynasol a eglurir: y mae efe yn cael ei ddatguddio megis offeiriad gogoneddus, Prophwyd gogoneddus, Brenin gogoneddus, Priod gogoneddus, Gwaredwr a Iachawdwr gogoneddus? ac yna fe fydd golwg ar ei gyflawnder gogoneddus yn yr holl berthynasau hyn, a'r addasrwydd gogoneddus o'r digonolrwydd a'r cyflawnder hynny, oll yn gyfattebol dros yr enaid: ac fel hyn yn datguddio ei hun; y mae efe yn symmud yr holl eiddigeddau a'r camsyniadau oddiar y ddiweddi; cyflawnir ei holl eisiau yn iachau ei holl glefydau, ac yn cynnyg dros ben ei holl gyd-garwyr; pwy a all gynnyg dim i hudo'r enaid, pan y gall, ac y mae yn dywedyd, yr wyf yn Holldigonol i'th gynnorthwyo di.

(3) Yr ydwyf yn dyfod 'rwan at y trydydd peth a fwriadwyd, hynny yw, I. gynnyg ychydig resymmau am yr athrawiaeth, Paham y mae Crist yn dyfod dan undeb priodasol i gredinwyr? Yr ydwyf yn atteb, 1af, Ei ewyllys penarglwyddiaethol ei hun ydyw'r reswm goreu paham y mae yn dyfod dan undeb priodasol yn yr achos hyn; Ie, O DAD, canys felly y rhyngodd bodd i ti, *Mat.* xi. 26. Nid ydyw ei

weithrediadau i gael eu profi wrth farr ein resymmau ni: y mae ganddo drugaredd o herwydd ei fod yn trugarhau.

2. Ei gariad tuag attynt hwy sy'n ei wneuthur ef iddynt dan y cyfryw berthynas â hwynt; A chariad trugareddol y'th gerais: am hynny tynnais di â thrugaredd. Cariad ydyw'r cymhelliad sydd yn ei rwymo ef; cariad ddaeth âg ef o'r nefoedd drostynt hwy; cariad a'i hoeliodd wrth y groes drostynt hwy; cariad a'i dododd yn y bedd drostynt hwy; a chariad sydd yn ei rwymo ef i undeb priodasol â hwynt.

3. Y mae efe yn ei wneuthur ef er gogoniant ei rhad ras ei hun, trugaredd, a chariad. Fel ac yr oedd cariad a thrugaredd ei gymhelliad ei hun, felly yr oeddynt ei ddiwedd, fel ag y gallai hardd-ddangos a'i ddatguddio ef hyd yr eithaf. Y mae y Briodoledd hyn ar y llinyn pellaf. Anfeidrol ddoethineb a allasai ddyfeisio miloedd o fydoedd; ac anfeidrol allu a allasai eu gwneuthur hwynt; ond y mae cariad Duw gwedi myned i'r uchelder pellaf; nid yw bosibl i Grist roddi chwaneg arddangosiad o'i gariad nag a wnaeth, wrth roddi ei fywyd dros y ddiweddi, a myned dan undeb priodasol â hi.

4. Y mae efe yn gwneuthur hynny fel ag y gallo arlwyo gwaith i'r cwmni bendigedig yn y ty uchaf; o herwydd, ar y ddaear y mae y cyttundeb yn cael ei dynnu i fynu: 'rwan ydyw diwrnod y briodas: y nefoedd fydd y diwrnod

o gyflawniad y briodas: nid ydyw hi 'rwan ond amser arddeisyfu a charuaidd: ond fe ddaw dydd pan y caiff y neithior ddwys ei chadw, a hwnnw a barhaiff tra y parhao dydd tragywyddol.—Hyn a gaff foddloni am resymmau'r athrawiaeth.

(4) Y pedwarydd peth ydoedd, I wneuthur ychydig gymmwysiad; ac fe gaiff fod, 1af, Am hyspysrwydd. 2. Galarnad. 3. Holiad; Ac yn bedwarydd, Annogaeth. Yn awr am y rhai hyn yn ol eu trefn.

1af Am hyspysrwydd. A ydyw felly, fod undeb priodasol rhwng Crist â chredinwyr.

1af Y mae hyn yn hyspyssu i ni am anfeidrol gariad Duw tuag at bechaduriaid colledig, yn rhoddi ei Fab ei hun yn Briod ac yn Waredwr iddynt hwy; canys felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei unig anedig Fab, fel na chollir pwy bynnag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fwyd tragywyddol, Ioan, iii. 16. Fe garod Duw y byd, fel na's gall nag angylion na dynion byth fynegu.

2 Y mae hyn yn mynegu i ni am anfeidrol gariad Crist, yn dyfod dan y fath ddarystongiad i fod yn Briod i'r fath ddiweddi. Ni's gall'sai ddyfod i mewn i galon yr angel doethaf yn y nefoedd, y byddai i Grist, tragwyddol Fab Duw, i ddyfod yn ddyn; a llawer llai y byddai iddo gymmeryd y fath greadur aflan anhardd yn ddiweddi wrth ei law ag ydyw pechaduriaid: pe

buasai iddo rhoddi i ni ein haeddiant, efe a fuasai yn gwneud i uniondeb farchogaeth yn fuddugoliaethus trosom ni, ac uffern i ddadseinio gydâ thragywyddol bendigaid o glodforedd; ennyniad uniondeb; ond i'r llwyr gwrthwyneb, efe a'i trefnodd felly, i'r nefoedd ddadseinio gydâ thragywyddol Halaluia a chlodforedd i'w ei raslawn drugaredd a rhad ras, yn dewis y rhai'n ag oedd elynion, ac yn eu caniattau hwynt i'w fynwes fendigedig.

3. Y mae'r athrawiaeth hon yn mynegu i ni am ddiogelwch y credadyn. Yn cael Crist yn briod iddi hi, pwy a eill wneud niweid iddi? Y mae yn ddyledswydd priod, chwi a wyddoch, i ddiogelu ac amddiffyn ei ddiweddi: ac y mae yn sicr na fydd Crist ddim yn fyrr o hyn i'w ei ddiweddi, Cuddi hwynt yn nhirgelfa dy wyneb rhag balchder dynion: cuddi hwynt mewn pabell rhag cynnen tafodau, *Sal.* xxx. 20. Canys ar yr holl ogoniant y bydd amddiffyn, *Esaia* 45. Y mae efe yn ei cuddio hwynt â mantell ei rhagluniaeth, mantell ei gyfiawnder, mantell ei eiriolaeth, mantell ei yspryd; yn siccr gan hynny y mae diweddi Crist mewn cyflawn ddiogelwch: Y mae ganddo ef ystafell-oedd neillduedig iddi i'w chadw hi nes el heibio dydd digofaint.

4. Y mae'r athrawiaeth hon yn rhoddi i ni ganfod, nad ydyw credinwyr ddim y fath bersonau gwael a dirmygedig ag y mae'r byd yn

gyffredin yn cymmeryd eu bod hwynt; diweddi Crist ydynt hwy, ac efe yw eu Priod: ac O, y fath anrhydedd ydyw i fod yn briod â Mab Duw! gwedi ei gael ef yn briod, y maent yn dyfod yn berthynedig â holl berthynasau Crist; y mae Duw yn Dad iddynt, o herwydd y mae efe yn Dad iddo Ef: angylion yw eu gweision, o herwydd y maent ei weision Ef; Seintiau yw eu cyd-weithwyr, o herwydd eu bod yn aelodau iddo Ef; y nefoedd yw eu hetifeddiaeth, o herwydd ei bod yn deyrnas eu Priod. Mewn gair, pa beth bynnag sydd ganddo, sydd eiddynt hwy, canys pob peth sydd eiddo * chwi, a chwithau yn eiddo Crist; a Christ yn eiddo Duw. 1 *Cor.* iii. 22. 23.

(3) Er galarnad. A ydyw felly, fod undeb priodasol rhwng Crist a chredinwyr? y mae hyn yn galw am alarnad dwfn yn y ddwy ystyriaeth hyn.

1. Y mae yn galw arnom ni i alaru fod gan Grist cyn lleied ddiweddi yn ein plith ni, er ei fod yn garuaidd ac yn ein caru ni trwy'r efengyl, gan lefain, Wele fi, wele fi, *Esaia* xlv. 1. Etto pa le y mae'r dyn neu ddynes a lwyddwyd gydag i ddyfod i ymbriodi â'r Priodfab gogoneddus hwn? Er ei fod yn deccach nâ meibion dynion, ac yn ymddarostwng i ymbriodi â

---

* O blegid pa genedl mor fawr, yr hon y mae Duw yn nesaf atti, fel yr Arglwydd ein Duw ni, ymhob dim a'r y galwom arno? Deut. iv, 7.
'Does bobl fedd fath fraint a'r seintiau dan y nef.

phechaduriaid, ag sydd mor ddu a ffiaidd ag uffern ei hun, er hynny y maent yn ei osod ef yn ysgafn, ac yn rhoddi iddo achlysur cyfiawn i'r achwyniad athrist hynny, ond ni wrandawai fy mhobl ar fy llef; ac Israel ni'm mynnai, *Sal.* lxxxi. 11. ac oni all efe appelio i'r annefnyddiol greadigaeth i farnu am ein ynfydrwydd, megis ag y gwnaeth am Israel, *Jer.* ii. 12, 13. O chwi nefoedd, syniwch wrth hyn, ac ofnwch yn aruthrol, a byddwch anghyfannedd iawn, medd yr ARGLWYDD, canys dau ddrwg a wnaeth fy mhobl, hwy a'm gadawsant i, ffynnon y dyfroedd byw, ac a gloddiasant iddynt ei hunain bydewau, ie, pydewau wedi eu torri, ni ddaliant ddwfr.

2. Yr athrawiaeth hon a eill weini i ni fatter o alarnad etto, fod credinwyr, pa rai sydd gwedi ymbriodi ag ef, yn rhodio mor anweddaidd i'r fath briod. Chwi a wyddoch y dylai gwraig ymddwyn ei hun mewn cydffyrfiad a charactr ei phriod; ac lle y mae ei ymddygiad yn ddirmygus ac yn wael, y mae hi yn edliwio dianrhydedd arno ef.

O mor anaddas ydyw i weled diweddi Crist wedi eu difwyno â brynti uffernol! i ganfod y rhei'ny ag sydd gwedi taro llaw gydâ Christ mewn cyttundeb priodasol, yn cyssylltu dwylaw gyda llygredd ac eulynod, ac yn difwyno eu hun a hwynt.

(3) Er ymholiad, gadewch i ni ymofyn a ydym

ni gwedi dyfod i berthynas ag ymbriodi fel hyn a Christ; pa un a ydyw efe yn briod i ni, a ninnau ei wraig a'i ddiweddi.

Mi a gaf gynnyg ychydig nodau, wrth ba rhai y gallwn wybod pa un ai ydym neu nad ydym gwedi ymbriodi a'r Priodfab gogoneddus hwn, a hwy a allant gael eu tynnu oddiwrth yr ystyriaeth am y Flaenoriaeth, yr Elfennau a'r cydgaulyniad o'r briodas hyn.

1af, Cynnyg wrth y Flaenoriaeth i'r cyttundeb priodasol. Cyn erioed i Grist gyttuno a thi, a ddarfu i ti ddal sylw arno ef yn caru dy enaid cyn y cyttundeb hyn?

Dyma garwriaeth ynawr: 'rwan pa fodd y darfu i Grist dy garu di?

1af, A ddarfu iddo dy garu di a llymder y gyfraith, megis â thân a chleddyf? A ddarfu iddo dy garu di trwy'r cyfryw air a hwn, yr ydwyt yn adyn melldigedig; canys melldigedig yw pob un nad yw yn aros yn yr holl bethau a 'sgrifenir yn llyfr y ddeddf i'w gwneuthur hwynt, *Gal.* iii. 10. A ddarfu iddo dy garu di â'r fath gyffelyb air a hwn, Melldigedig yw yr hwn a wnelo waith yr Arglwydd yn dwyllodrus? A tharfu iddo dy garu di fel hyn, Trwy Yspryd caethiwed, gydâ dychrynfeydd Duw, megis gwedi ei ddilladu a dialedd, yn dywedyd wrthyt ti, dy fod yn etifedd uffern a digofaint, yn blentyn y diawl? A ddarfu iddo dy garu di fel ag yr oeddit gwedi dy amgylchu ag ofn a thrallod?

2. A ddarfu iddo dy garu di a llymder y gyfraith, ac a melysdra yr efengyl, pan y'th welodd di gwedi dy fwrw i lawr, pan y'th welodd di druan, dlawd, lwythog bechadur yn debyg i gael dy lethu dan dy feichiau? A ddarfu iddo pryd hynny dy garu di a'r cyfryw air a hwnnw, Deuwch attaf fi bawb a'r sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythhaf arnoch, *Mat.* xi. 28: neu a'r cyfryw air a hwn, O deuwch i'r dyfroedd, bob un y mae syched arno, ïe, deuwch, prynwch wîn a llaeth heb arian, ac heb werth. Ffowch i'r amddiffynfa gadarn, chwi garcharorion gobeithiol. A ddarfu iddo fel hyn eich caru chwi a chynnygiad o'r efengyl?

3. A ddarfu iddo fel hyn dy garu di trwy ei lythyr caru gwedi ei ddanfon oddiwrth Grist o'r nefoedd? Ond chwi a ofynwch, beth ydyw'r llythyr caru? hynny yw y Bibl. Chwiliwch yr ysgrythyrau; hwynthwy yw y rhai sy'n tystiolaethu am danaf fi, *Ioan* v. 39. Dyma lle y mae mynegiadau o gariad Crist i dy enaid: dyma lle mae addewidion caru yn y llythyrau hyn, ag a gaiff fod yn eiddo i ti. A ddarllenaist ac a ddwys ystyriaist di hwynt? ac a elli di ddywedyd i Grist eu llefaru hwynt wrth dy galon? Pe byddai ond testyn a bregethwyd arno, neu os ydyw ond un gair, o Grist a ddiferoedd i dy galon! ac yr wyf yn tybied yr aiff gyda mi i'm claf wely; efe a

ddaeth gydâ'r fath nerth a bywyd. mewn gair, a geisioch chwi un dawn cyn y cyttundeb priodasol, megis y dawn o wir argyhoeddiad, y dawn o gystudd yspryd, y dawn o wir ymddarostyngiad, y dawn o hunan-ymwadiad, y dawn o ffydd? Y mae y rhai hyn yn cael eu rhoddi, rhai o flaen, a rhai ar y cyttundeb.

2. Cynnyg trwy Elfennau y briodas.

1. Os ydyw'r briodas hyn gwedi ei gwneuthur i fynu rhwng Crist a thydi, pryd hynny ti a roddaist heibio bod cariadau eraill heblaw Crist, y fraich ddehau a dorrir ymaith, y llygad dehau a dynnir allan; ti a fyddi yn ysgaredig oddiwrth bob priod arall, yn neillduedig oddi wrth y ddeddf, fel ag y gallot ymbriodi â phriod arall, hwnnw yw Crist. Ond ti a ddywedi, pa beth yw bod yn farw i'r ddeddf? Yr wyf yn atteb, Nid ei gosod heibio fel rheol ufudd-dod; o herwydd fe gaiff y ddeddf fod etto yn rheol a baner o ufudd-dod y credadyn, bywyd ac ymarweddiad: ond i fod yn farw i'r ddeddf, ydyw bod yn gydnabyddus na's gall y ddeddf byth ein hachub ni megis cyfammod o weithredoedd. Y mae i ni wadu pob gobaith o gael ein cyfiawnhau trwy'r ddeddf, neu trwy ein gweithredoedd neu'n hufudd-dod iddynt. Mi welaf Grist, y Priod gogoneddus, gwedi dyfod i mewn â thragywyddol gyfiawnder, cyfatteb i'r ddeddf yn gyflawn: dyma'r wisg sydd rhaid i mi ddodi am danaf, a thaflu ymaith fy mrattiau pydron.

2. A roddaist di gydsyniad caredig ar ddydd y cytundeb? A ellwch chwi ddywedyd i chwi gael eich cynnorthwyo i'w gymmeryd ef, fel y Salmydd, O fy enaid, ti a ddywedaist wrth yr Arglwydd tydi yw fy Arglwydd; a thydi wyt fy Nuw fy Mhen, fy Mhriod? A roddaist di gydsyniad resymmol iddo, ie, goruwch-resymmol, a goruwch-naturiol gydsyniad? dwys fwriadol, diwair, attegiad, pendant gydsyniad? a ddywedaist di mewn ffydd, a chydâg awel o'r nefoedd, ei fod ef yn eiddo i ti, ac a gaff fod byth?

Y mae yn wir y gall dynion fod gwedi ymbriodi â Christ ac ni's gallant gyduno am yr amser pendant; fe eill yr Yspryd weithio rhai prydiau rhai ffyrdd nid adwaenom ni; er hynny ei ffordd gyffredin tuag at ei ddiweddi, yn ol llawer o'i thaflu i dorri i mewn gydâ thra hyfryd orchfygol felysdra, i dynnu allan ei henaid i ddwys ac hynod lynu wrtho ef, ac yn caniattau iddo ef. A ddarfu i ti pryd hynny ymrwymo i wneuthur trwodd dy hun i'r Priodfab, trwy ddigêl ymroddiad o dy hun iddo Ef, nid yn unig i ti ei gymmeryd Ef yn gyflawn, a thros byth, yn Sancteiddrwydd ac yn ddedwyddwch, yn oleuni ac yn fywyd, yn ras ac yn ogoniant, ond hefyd gwneuthur drwodd dy hun iddo ef, gorph ac enaid, pa beth bynnag ydwyt, pa beth bynnag fuost? A gefaist di dy wneud fel hyn i ymroddi dy hun i'r Arglwydd? A

ydwyt yn un gydâg Ef? A oes gennyt un yspryd gydâg ef? A ydwyt o un ffydd gydâg ef, o un ffordd gydag ef, yn ymegnio i rhodio megis ag y rhodiodd Efe?

3. A elli di ddweud, ar ddydd y briodas, i ti gael rhodd briodasol oddiwrth y Priodfab? Ymhlith yr Iuddewon, yr oedd y Friodfab i roddi rhodd briodasol i'w ei ddiweddi: yn awr, pa rodd a gefaist ti ar ddydd y briodas hon? A elli di ddywedyd, yn wir mi a gefais y wisg briodas; efe a'm gwisgodd i â'i gyfiawnder, pa un a nyddodd o'i ymysgaroedd ei hun, gwedi ei wau â'i ddwylaw ei hun, a'i liwio â'i waed ei hun; ac fel hyn y mae fy holl euogrwydd gwedi ei guddio, y mae'r felldith gwedi myned heibio? Peth ydyw hyn yn wir nid oes ond ychydig yn ei gaffael, etto y mae rhai gwedi bod, ac y maent yn abl i ddweud, yr ydwyf gwedi fy ngwaredu oddiwrth y llid sydd i ddyfod; ac nid oes damnedigaeth i mi; ac ar y cyfryw amser mi a gefais hefyd addurn o'r grasusau gan yr yspryd, pa rhai yr ydwyf yn eu gwisgo megis tlysau, hynny yw, ffydd, cariad, ufudd-dod, amynedd, gostyngeiddrwydd: ac mi gefais addewid o'r cant cymmaint yma; ac yr ydwyf yn erfyn mwy o roddion etto, cyn i'r briodas gael ei gorphennu; yr ydwyf yn disgwyl am fwy o sicrwydd, yr ydwyf yn byw mewn gobaith o ogoniant; yr ydwyf yn disgwyl am bardwn gwedi ei selio am faddeuant o'm holl

bechodau, ac yr ydwyf yn disgwyl am gael ernes yr Yspryd, yn chwaneg bob dydd.

4. Blaenoriaeth arall o'r cyfammod priodasol hyn ydyw, fod y ddiweddi, ar y diwrnod hwnnw, yn tynnu ymaith un gorchudd, ac yn gwisgo un arall am dani: yr oedd hyn yn ymarferiad Iuddewig; y mae'r ddiweddi yn tynnu ymaith y gorchudd o gywilydd, ac yn dodi arni y gorchudd o ymostyngiad. Ni's gall diweddi Crist cyn y briodas, ddisgwyl ar y Priodfab yn ei wyneb; y mae cywilydd arni ddisgwyl arno ef, ond fe wneir iddi hi dynnu ymaith y gorchudd yngwydd ei chariadau o'r blaen, ac i gymmeryd Crist gyferbyn ei ddwylaw; ar y pryd hynny y mae hi yn dodi arni y gorchudd o ymostyngiad, trwy ba un y mae yn addunedu, yn ei allu ef, i ymostwng ei hun i ewyllys ei phriod. A ddarfu i ni fel hyn addunedu i fod yn ufudd i'w orchymynion, yn ei allu ei hun, pa beth bynnag y mae efe yn erchi i ni oddef?

3ydd, Y cyd-ganlyniad o'r briodas. A fynni di wybod os bu cyfammod rhwng Crist a thithau? Chwilia gan hynny y canlyniad digyfrwng! A welaist di y * Brenin yn ei ogoniant, a'r cyfryw ogoniant ac ardderchowgrwydd ynddo ef, fel

* Mae rhyw rhyfeddod mawr didrai,
I'w gaffael yn dy wedd;
Pleser y nefoedd faith i gyd,
Yw yfed o dy hedd.

na's gellid cael un cydymariaeth trwy ogoniant deng mil o fydoedd?

Pa beth ydoedd dy ymddiddan di tuag Ef ar ddydd y cyfammod? A elli di ddywedyd, Efe a'm cofleidiodd i yn ei freichiau, a minnau a'i cofleidiais yntau yn fy nghalon, ac yr oedd cymmundeb a chyttundeb melus rhyngddo ef â mi?

3. A gefaist ti dy goroni ar ddydd y briodas, fel ag yr oeddynt yn adnabyddus gan y naill, fel pe byddai, i fod yn ddiweddi i Grist? Yr Iuddewon, oeddent nid yn unig yn coroni y Priodfab, ond y ddiweddi hefyd. Chwi a welwch pa beth ydyw'r goron y mae diweddi Crist yn ei gael, *Dat.* xii 2, A rhyfeddod mawr a welwyd yn y nef; gwraig gwedi ei gwisgo â'r haul, a'r lleuad dan ei thraed, ac ar ei phen goron o ddeuddeg seren. Y mae diweddi Crist gwedi ei choroni âg athrawiaeth y deuddeg apostol.

4. Y mae diweddi Crist yn ymgadw yn nhre', ac y mae yn ymhyfrydu yn ystafell y ddiweddi. Dyma ei hyfrydwch holl ddyddiau ei bywyd, sef caffael trigo yn nhy'r Arglwydd, i weled Prydferthwch yr Arglwydd, ac i'w ymofyn yn ei deml. Ordeinhadau a fyddant felus, gan eu bod yn y rhodfeudd lle mae'r brenin yn cael ei weled.

2 Chwilia trwy yr anian a dyledswyddau'r ddiweddi, pa rai sydd hefyd yn flaenoriaeth i'r briodas hyn,

1. Os ydwyt yn ddiweddi Crist, yna ti a garu'r Priodfab. Cariad yw'r dyled sydd ar y wraig i'w gwr; llawer mwy y mae'r credadyn yn ddyledus o hono i Grist, pa un a hyspysodd lawer mwy o gariad i'w ei ddiweddi nag â wnaeth gwr erioed i'w wraig: Efe a'i carodd hi, ac a roddodd ei hun drosti hi. Efe a dywalltodd waed poetha ei galon i'w hachub a'i gwaredu hi. Chwi a'i carwch ef gydâ chariad o ddymuniad; â'm henaid y'th ddymunais liw nos: gydâ chariad o hyfrydwch; fy myfyrdod am dano fydd melus: gydâ chariad o ewyllys da, yn dymuno yn dda i'w hawl: Os anghofiaf di, Jerusalem, anghofied fy neheulaw ganu; glyned fy nhafod wrth daflod fy ngenau, oni chofiaf di; oni chofiaf Jerusalem goruwch fy llawenydd pennaf, *Sal.* cxxxvii. 5. 6. Y rhai hynny ag sydd yn arferol o garu gwr, gwraig, plant, neu rhyw beth mwy na Christ, nid oes un resymmau ganddynt eu bod gwedi priodi â Christ.

1. Os ydym gwedi ymbriodi a Christ, nyni a ymorphwyswn, ac a ymddiriedwn yn ein priod. I bwy y gall gwraig ymddiried, os nid yn ei Phriod? Y mae'r credadyn yn ymorphwys ar Grist am ras a gogoniant: ac yn ymroddi pob beth iddo ef, gan ddisgwyl pob peth oddiwrtho ef. Yr enaid ag sydd gwedi ymbriodi a Christ, y mae yn disgwyl ar anfeidrol rinwedd ei waed, yr anfeidrol effeithiau o'i Yspryd, yr anfeidrol

gyflawnder o'i ras, anfeidrol ffyddlondeb ei addewid: yn yr holl rai hyn y mae yn gweled anfeidrol sylfaen o obaith, ar hynny y mae yn anturio, gan ymdreiglo y cwbl arno ef. Yma y mae efe yn dywedyd, yr arosaf ac yr ymorphwysaf; yma lle'r adeiladaf, dyma lle'r wyf gwedi penderfynu i aros, dyma lle'r wyf yn bwriadu i fyw a marw.

3. Os ydym gwedi ymbriodi a Christ, y mae gennym zêl am ei ogoniant. Y mae rhai yn offrymmu hawl Crist i'w ei gogoniant ei hun: ond y mae'r credadyn yn dywedyd, Gadewch i fy meistr gynhyddu, a minnau leihau. Er pe byddai i'm henw byth gael ei glywed yn y byd, caffed Crist ei ddyrchafu. O! medd diweddi Crist, mi a ddymunwn i'r holl fyd ddyfod i'w fawrhau Ef! mi a ddymunwn i'r holl fyd ddyfod i'w garu ef! myfi a ddymunwn i'r holl fyd ei glodfori! yn enwedig pan y mae hi dan un cynhyrfiad bywiol, O pryd hynny, medd hi, pe byddai i'r gelyn pennaf weled pa beth sydd yn yr Arglwydd, hwy a ddeuant i uno ag ef, megis y gwnaethum innau!

4. Ni's gall diweddi Crist fyw hebddo. Gwraig onest a welai yn galed i ddodi wrthi, i fyw lawer o flynyddoedd heb ei phriod. O y mae weithiau megis uffern iddi hi fethu ei gael ef mewn ordeinhadau! O y moddion dolurus a griddfannau trymion yr enaid ffoiadurus, a gafodd brofiad o'r melusdra sydd yn Nghrist! O

na wyddwn pa le y cawn ef! fel y deuwn at ei eisteddfa ef! *Job* xxiii. 3. O na fyddai gyda myfi megis yn y dyddiau gynt.

5. Os ydwyt yn ddiweddi i Grist, ti a fyddi weithiau yn hiraethu am ei ail ddyfodiad; mwy neu lai ti a ddymuni ddydd y farn, ac a hiraethi am ei ymddangosiad. Diwedd-glo holl ymddiddanion melus y ddiweddi ydyw, Brysied fy anwylyd, a bydd debyg i iwrch neu lwdn hudd ar fynyddoedd y perlysiau, hyd oni wawrio y dydd, a chilio o'r cysgodau. A diweddglo yr holl Fibl ydyw, Tyred, yr Arglwydd Iesu, tyred ar frys, *Dat.* xxii. 20. A ellwch chwi ddweud i chwi hiraethu am ei ddyfodiad? Myfi a welaf ddiafol yn teyrnasu yma, llygredd yn teyrnasu accw, a phyth ni fydd ddim yn iawn nes del efe etto ar y cymmylau, a gosod nefoedd a daear ar dân, pan y caffo'r neithior ddwys hon ddechreu ei chyhoeddi, a'r briodas ddigrif ei chadw tra parhao tragywyddoldeb.

6. Os bu priodas rhwng eich eneidiau chwi a Christ, yna pryd hynny y mae yn barod rhyw arwydd cariad i offrymmu; yr wyf yn meddwl, rhai profiadau a rhai darluniadau o'i gariad cyfammodol: chwi a ellwch ddywedyd, iddo ryw bryd neu gilydd ddyfod a chwi i'r gwin-dy, ac a ddododd ei faner o gariad trosoch. Rhai prydiau efe a ymhelaetha eich eneidiau â thaer ddymuniad hiraethus am dano ef, ac a'ch digona chwi a digonedd ei dy. Yr enaid sydd mewn

gwirionedd gwedi ymbriodi a Christ, y mae ganddo eisioes rhyw brofiad o'i gariad i fynegu am dano.

7. Y mae diweddi Crist yn ddiweddi ddihalog: nid yw eulynod byth yn cael ei chalon fel ag o'r blaen; er y gall hi yn awr a phryd arall roddi traws edrychiad, etto nid yw'r eulynod byth yn cael cyn belled lle yn ei serchiadau ag yr oeddynt unwaith yn ei gael: y mae arni ofn gwneuthur dim a fyddo yn anfoddlon ac yn ddianrhydedd iddo ef: oddi yma y cawn weled diweddi Crist yn anadlu allan ei thaer-ddymuniad ac erfyniad ar Dduw am ei chadw a'i harwain ar hyd ffordd cyfiawnder: O am gyfeirio fy ffyrdd i gadw dy ddeddfau, *Sal.* cxix. 5. Oddi yma y mae yn griddfannu i fynu ei chwyn, Ys truan o ddyn wyf fi! pwy a'm gwared i oddiwrth gorph y farwolaeth hon! *Rhuf.* vii. 24.

8. Os ydym yn ddiweddi i Grist, ni a fyddwn yn ddiweddi ffrwythlon, gadewch i ni ymofyn, a oes gennym ni ddim un math o weithredoedd da, neu ras? Dy fru, medd Crist wrth ei ddiweddi, sydd fel twr gwenith, *Can.* vii. 2. Chwi a wyddoch fod gwenith yn beth ffrwythlon iawn; yr enaid anffrwythlon yr hwn ni's carodd erioed, erioed ddim gwedi ei fawrhau, erioed heb etifarhau, erioed ni rhoddodd eulusen, erioed ni ymddangosodd dros Dduw: nid ydyw'r enaid anffrwythlon yna yn ddiweddi i Grist; o herwydd y mae diweddi Crist yn

ffrwythlon.—Cymmaint a hyn mewn ffordd o holiad.

4ydd, Er ANNOGAETH. A oes priodas ysprydol rhwng Crist a chredinwyr? O gan hynny! a gawn ni ddim ein perswadio i ddyfod i lynu wrth Grist fel priod i ni, a chymmeryd ein gwneuthurwr yn briod, ein Duw yn briod? Os ydym yn uchel-frydedig, dyma ben uchelfryd, IESU GRIST; os ydym yn drachwantus, dyma lle mae Gwir Gyfoeth; Pa beth bynnag yr ydym, pa beth bynnag fuom, os deuwn atto ef, ni fwrw efe ni allan mewn un wedd: y mae'n wir na's gallwn ddyfod o ran ein hunain, ond gadewch i ni lefain, ARGLWYDD, os byddaf farw, cleddir fi dan y drugareddfa, yn gweddio, wylofain, yn disgwyl fel y gallwyf, a myned i uffern a Christ yn fy nghalon, cymmaint ag a ewyllyswyf. Dewch at Grist, ac efe a orchfyga eich anallu; gosodwch eich achos o'i flaen ef, gan ddywedyd, ARGLWYDD yr wyf yn un truenus, yn y gradd pellaf; ARGLWYDD, dyma gynnyg mawr gwedi ei rhoddi, nid oes gennyf galon iddo ef; O tyred, a rho amlygiad o gyflwr colledig, ac o'th ragorol ogoniant. O tyn allan fy nghalon, a gad i mi farw ar y man, yn hytrach na gwrthod Crist dros byth! Llawer o gymhelliad a ellir ei gasglu; ystyriwch ddim ond

1. HAWDDGARWCH a thegwch Crist. Y mae ei degwch yn gyffredinol; Y mae efe yn hawdd-

gar yn ei berson, yn hawddgar yn ei naturiaethau, yn hawddgar yn ei swyddau, yn hawddgar yn ei ystad o ddarostyngiad a dyrchafiad, yn hawddgar yn ei holl berthynasau; y mae ei degwch yn dull-newidio, efe á wnae'r ddiweddi yn dêg hefyd; y mae yn gyfrannogol, y mae'r ddiweddi yn cael ei gwneud yn dêg trwy ei degwch ef. Pan yr ydym yn llefaru am degwch Crist, ni a ddylem adael angylion a seintiau fry, pa rai sydd a mwy o ddigyfrwng dreiddiad meddwl am y llewyrchiol wychder o'r gwrthddrych bendigedig hwn, dos allan i fynegu ei ogoniant. Y mae pob peth ynddo ef yn hawddgar, ac nid yw dim yn hawddgar hebddo ef; nid yw dim yn hawddgar ond peth sy'n deilliaw oddiwrtho ef, ac yn mvned atto ef; y mae efe yn hawddgar, ac nid ydyw bosibl iddo fod yn wrthwyneb: efe yw'r gwreiddiol, dechreuol, ac anghenrheidiol * hawddgarwch.

2. Ystyriwch, megis y mae efe yn hawddgar, felly y mae efe yn garedig; y mae ei gariad yn anfeidrol, tragywyddol, rhad, gwahaniaethol, effeithiol, ni charodd dyn erioed fel efe. O pwy faint o blygiadau sydd yn y cariad hwn, yr hyn ni's gellir byth ei eglurhau.

3. Ystyriwch os glynwn ni gydâ Christ ni a

* Ar dir na môr, ei debyg gwn nad oes,
Seraphiaid pur ni thraethant byth ei oes:
Dringo a wnaf trwy nerth ei ras o'm gwae,
Ne's caffwi'n glur ei weled fel y mae,

rhoddwn iddo ef galon ewyllysgar, y mae ei galon yn siriol ar y diwrnod hwnnw, pan y mae yn cymmeryd pechadur gerfydd ei law; dydd ei briodas ydyw dydd gorfoledd ei galon. Pa sawl gwaith y darfu i ni ei dristau ef wrth ein rhagrith ffurfiol, a'n anewyllysgarwch? A rhoddwn ni iddo ef galon siriol bellach, am yr holl galonnau trist a roddasom iddo ef? gan hynny gadewch i ni ei gofleidio ef fel ag ei cynnygir yn yr efengyl, a phryd hynny y bydd efe yn siriol. Paham? gan hynny efe a wêl y ffrwyth o etholiad, y ffrwyth o bryned-igaeth, y ffrwyth o'i angau, y ffrwyth o'i adgyfodiad: pryd hynny y mae yn cael yn ol deml yr Yspryd Glan; y mae'r ddafad golledig gwedi ei chael drachefn: pryd hynny y mae yn cael yn ol yr aelod o'i gorph ei hun.

Mi a allaf roddi ychydig mewn ffordd o gyfarwyddiad: a chwi a ellwch ddweud, pa beth gan hynny a wnaf fel yr ymbriodwyf â Christ?

Mewn un gair, os mynnwch Grist yn lle priod i chwi, O gan hynny derbyniwch ei gynhygiad, a gwrandewch ar ei garedig a'i annogaidd garwriaeth! A ydyw efe yn saethu goleuni i'ch calonnau chwi, ac yn rhoddi i chwi weled y drwg o rhyw bechod ag oeddych chwi o'r blaen yn ymbleseru ynddo? O na wrthwynebwch ei gynhygiad, trwy barhau mewn pechod ar ol hyn! A ydyw efe yn cadarnhau y goleuni hwnnw fel ag y gosodo efe y gydwybod ar

dân trwy'r teimlad o bechod, ac amgyffred am ddigofaint? O, na ddiffoddwch y tân hwn ne's cael y dwfr o ffynhonnau iechydwriaeth! onitê ti a wrthodi ei gynhygiad. A ydyw efe yn cario'r cynhygiad ymhellach, ac yn cynhyrfu i fynu dy serchiadau i ddymuno am Grist. O na ddiffodda yr annogaethau hyn! ond llefain arno ef i sefydlu y rheol yn sicr, a chario ymlaen y gwaith, nes i'r briodas gael ei chyflawnu.

Bellach, mi a allaf roddi gair o Annogaeth hefyd i'r rhei'ny ag sydd gwedi cyduno ac ymbriodi â Christ.

Y cwbl a gaf ddweud yw hyn; O bydded i ddiweddi Crist fyw arno ef, a chymmeryd pob peth oddiwrtho! megis menyw dlawd gwedi ymbriodi a dyn cyfoethog; y mae hi yn byw ar ei gyfoeth. Y mae llawer yn barod i ddweud, ni a fyddwn byw arnom ein hunain; ni a weddian, etifarhau'n creda'n &c. ond y mae yn rhaid i ddiweddi Crist gael y pethau hyn i gyd ynddo ef, a chymmeryd pob peth oddiwrtho ef, a byw yn hollol arno ef, ac yn rhydd arno ef. Pan yr oedd brodyr Joseph ddim yn ei adnabod, yr oeddynt yn prynu ac yn gwerthu gydag ef: ni chymmerant ddim oddiwrtho heb dalu; ond pryd y daethant i adnabod ei fod ef yn frawd, er yr holl dramgwyddiadau a wnaethant iddo ef, yr oeddynt yn foddlon i dd'od i lawr bob gwr o honynt, a chymmeryd pob peth oddiwrtho ef am ddim; dyma'r ffordd y mae yn rhaid i chwi

wneuthur gyda Christ, pan y byddoch gwedi ymbriodi ag ef; y mae yn rhaid i ni beidio, gyda'r dyn deddfol i fod a edifeirwch a dyledswyddau o'r eiddom ein hunain, y mae yn rhaid i ni gymmeryd y cwbl oddiwrtho ef, yr hwn ydyw ystordy cyfiawnder dwyfol; dyma lle mae rhan credadyn, o'r cyflawnder hwnnw, i dderbyn gras am ras.

Mi gysgaf hûn yn dawel,
Dros ennyd ar y gravel;
Nes dadrys, dirwn y rhôd;
Ac yno mewn hedd,
Y codaf o'm bedd;
Ar hyfryd wedd fy Mhriod.

1 THOU dear Redeeming, dying Lamb,
We love to hear of thee;
No music's like thy charming Name,
Nor half so sweet can be.
2 Our Jesus shall be still our theme,
While in this world we stay;
We'll sing our Jesus lovely name,
When all things else decay.
3 When we appear in yonder cloud,
With all thy favour'd throng,
There we will sing more sweet, more loud,
A CHRIST shall be our Song.

## *CWESTIWN.*

A ALL dyn fod yn rhagrithiwr ac yntau heb wybod?

*Atteb.* Diammeu hynny: o herwydd y mae llawer yn chwarau y rhagrith, pryd y maent yn tybied eu bod yn ddynion duwiol iawn; y mae eu calonnau yn wahanedig; nid yn union ond yn amrywiog. Duw a'r creadnr sydd yn gwneud i fynu rhan iddynt hwy. Y mae y rhagrithiwr yn rhoddi rhan o'i galon i Dduw, ac i'r creadur ran o'i galon a'i amser; y mae yn rhoddi i'r nefoedd a dyledswyddau ran o'i galon a'i amser. Addoliad Duw, hynny sydd yn boddhau ei gydwybod; rhodfeudd pechod, hwnnw sydd yn boddhau ei serchiadau: a rhwng y ddau y mae yn foddlon. Nid yw Duw ei hun yn ei ymfoddloni ef; nid ydyw'r creadur ei hun yn ei foddloni ef, ond y mae efe yn rhedeg rhwng y ddau. Troed forchog ydyw nôd y diafol, y mae'r galon gwedi ei hymrannu. Ond y dyn pûr a pherffaith, ydyw un ag sydd ddim yn beiddio parchu anwiredd yn ei galon, ond sydd yn cymmeryd Duw yng Nghrist yn unig ei holl rhan a'i ddedwyddwch yr hwn sydd yn boddloni holl ddymuniad tra mawr yr enaid: ac at bwy yr af fi, medd efe? gennyt ti mae geiriau'r bywyd tragywyddol. Duw ydyw canol-barth a gorphwysfa yr enaid. Dchwel o fy enaid, i'th orphwysfa, *Sal.* cxvi. 7.

Mr. RALPH EKSKINE.

“*The Soul whom thou dost not suffice, deserves to be eternally poor.*”

Ar fy siwrnai wrth drefaelu,
Ni cheisia'i gyfaill ond yr Iesu;
Mae e'n Dduw wrth fodd fy nghalon,
Ond ei gael y mae e'n ddigon.

IESU, IESU, 'rwyt ti'n ddigon,
'Rwyt Ti'n llawer mwy na'r byd,
Mwy trysorau sy'n dy Enw,
Na thrysorau'r India i gyd;
Oll yn gyfan, &c.
Ddaeth i'm meddiant gyd a'm Duw.

TERFYN.



BRISTO: Argraphwyd gan J. BAKER.